# CANIADAU SEION;

SEF

## CASGLIAD O DONAU ADDAS I'W CANU YN YR ADDOLIAD DWYFOL:

YN CYNWYS

**NIFER LLUOSOG O ERDDYGANAU GWREIDDIOL,**

YN

**NGHYDA PHIGION O'R GOREUON O WAITH YR AWDURON GORAF, HEN A DIWEDDDAR,**

WEDI EU TREFNU

YN UNOL A PHRIOD-DDULL CERDDORIAETH EGLWYSIG GYMREIG.

---

GAN RICHARD MILLS, LLANIDLOES.

YR AIL ARGRAFFIAD AMERICANAIDD, GYDAG YCHWANEGIADAU;
DAN OLYGIAD JOHN MILLS, (BRAWD YR AWDWR) EDWARD J. LEWIS, AC EREILL.

---

UTICA:
ARGRAFFWYD GAN E. E. ROBERTS, RHIF. 2, SENECA STREET,
DROS Y PARCH. THOS. T. EVANS,—CYHOEDDWR.

1853.

# RHAGYMADRODD.

O BOB rhan o'r addoliad dwyfol, nid oes un rhan yn fwy urddasol a phwysfawr na chanu mawl, yr hyn yw y cyfrwng mwyaf effeithiol ac uniongyrchol trwy ba un y cyflwynir mawl, addoliad, a diolchgarwch i'r Bod Dwyfol gan eglwys Dduw yn y byd hwn a'r hwn a ddaw; ac o gymaint ag y mae yn rhagori mewn ardduniant a phwysfawrogrwydd ar bob rhan arall o'r addoliad, y dylai fod ein hymdrech i'w chyflawni mewn modd teilwng a dyladwy; ond gofidus yw meddwl nad oes un rhan yn cael ei hesgeuluso yn fwy na hon gan luoedd mawr o gynulleidfaoedd Cristionogol, y rhai a ymddygant ati fel pe bae yn annheilwng o unrhyw ddiwylliad, ac nad ydyw o un pwys pa mor wael ac annhrefnus y cyflawnir hi.

Cerddoriaeth, yn ei cysylltiad âg addoliad y gwir Dduw, sydd wedi bod mewn bri ac arferiad dan bob goruchwyliaeth. Mor fore ag amser Moses yr ydym yn cael fod Cerddoriaeth grefyddol yn cael ei hystyried yn rhan arbenir o addoliad y Goruchaf; ac y mae y dull a threfniad y gân ardderchog a ganasant ar ol eu mynediad drwy y môr coch, (Exod. xv,) yn dangos y fath fedrusrwydd yn y gelfyddyd ag sydd yn brawf digonol nad hwnw oedd y tro cyntaf iddi gael ei chysylltu â chrefydd, a'i dwyn i arferiad fel rhan o'r cyfryw. Mewn rhanau dylynol o'r ysgrythyrau santaidd yr ydym yn cael lluaws mawr o anghreifftiau yn dangos yr arferiad o Gerddoriaeth gan bobl yr Arglwydd gynt fel rhan arbenig o'u cyflawniadau crefyddol. Gwel Num. xxi. 17, 18; Deut. xxxi. 19.—32, sef cân Moses; Barn. v, sef cân Debora a Barac. Hefyd gellid chwanegu anghreifftiau lluosog o ysgrifeniadau y prophwydi, y rhai gan mwyaf oeddynt feirdd a cherddorion medrus, er dangos eu harferiad o honi a'u hyfrydwch ynddi. Fel hyn y dywedai y prophwyd Esay, pen xii. 4, 5,—"A chwi a ddywedwch yn y dydd hwnw, Molwch yr ARGLWYDD, gelwch ar ei enw, hysbyswch ei weithredoedd ef yn mhlith y bobloedd, cofiwch mai dyrchafedig yw ei enw ef. Cenwch i'r ARGLWYDD; canys godidogrwydd a wnaeth efe; hysbys yw hyn yn yr holl dir." Ond afraid yw chwanegu anghreifftiau fel hyn pan gofiom fod holl lyfr y Salmau, yr hwn sydd gasgliad o gyfansoddiadau beirdd ysbrydoledig, wedi ei fwriadu yn hollol i'w ganu yn ngwasanaeth ac addoliad Duw. Y mae yn amlwg fod rhan helaeth o'r caniadau dwyfol hyn o gyfansoddiad Dafydd frenin, yr hwn a elwir yn 2 Sam. xxiii. 1, yn "beraidd ganiedydd Israel.', Efe a ddyrchafodd y rhan hon o'r addoliad i harddwch a threfnusrwydd mawr yn mysg yr Iuddewon. "Ac efe a osododd gerbron arch yr ARGLWYDD weinidogion o'r Lefiaid, i gofio, ac i foliannu, ac i glodfori ARGLWYDD DDUW Israel. *Asaph* oedd yn benaf, ac yn ail iddo ef *Sechariah*, *Ieiel*, a *Semiramoth*, a *Iehevel*, a *Mattithiah*, ac *Eliab*, a *Benaiah*, ac *Obededom:* a Ieiel âg offer nablau, a thelynau; ac Asaph oedd yn lleisio â symbalau. Benaiah hefyd a Iahaziel yr offeiriad oedd âg udgyrn yn wastadol o flaen arch cyfammod Duw." A diau mai efe oedd awdwr y rhan fwyaf o'r tonau oedd mewn arferiad yn eu mysg; canys yr oedd nid yn unig yn Fardd rhagorol, eithr hefyd yn Gerddor medrus a chywrain, megys y dengys ei gyfarwyddiadau a'i fanylrwydd yn newisiad y cantorion a'r offerynau mwyaf cymhwys i ddatgan y cyfryw ganiadau, sef y Salmau. Y mae yn dra thebygol i wasanaeth y deml, yn ol fel ei sefydlwyd gan Dafydd, a Solomon ei fab, barhau felly hyd amser y caethgludiad i Babilon; ac yn amser yr adferiad dan Ezra, gosodwyd "y Lefiaid meibion Asaph â symbalau, i foliannu yr ARGLWYDD, yn ol ordeinhâd Dafydd brenin Israel." Ezra iii. 10, yr hyn a barhaodd y mae yn debyg yn y deml hyd ymddangosiad ein Hiachawdwr, a thros amser ei arosiad ar y ddaear, yr hwn ei hun a roddes i ni arwydd yn ei berson ei hun o'i foddlonrwydd i'r arferiad o Gerddoriaeth fel rhan o wasanaeth crefyddol; cynys dywedir i ni yn Mat. xxvi. 30, iddo ef ar ol y swper diweddaf, ganu hymn gyda ei ddysgyblion cyn myned allan i fynydd yr Olewydd, yr hon hymn a dybir oedd y cxiii. Salm a'r Salmau dylynol, y rhai a elwid gan yr Iuddewon "yr Haleliwia fawr," yr hon a genid ganddynt yn eu gwahanol deuluoedd, amser gŵyl y Pasc. Y mae Cerddoriaeth wedi bod mewn bri ac enwogrwydd o herwydd ei chysylltiad â chrefydd, nid yn unig dan oruchwyliaeth yr Hen Destament, eithr hefyd dan oruchwyliaeth y Testament Newydd. Y mae yn amlwg oddiwrth epistolau a gweithredoedd yr apostolion eu bod yn ystyried canu mawl i Dduw yn ddyledswydd orphwysedig ar holl ganlynwyr Crist. Gwel Col. iii. 16: "Gan ddysgu a rhybyddio bawb eich gilydd mewn Salmau, a hymnau, ac odlau ysbrydol, gan ganu trwy ras yn eich calonau i'r Arglwydd." Eph. v. 19: "Gan lefaru wrth eich gilydd mewn [Salmau, a hymnau, ac odlau ysbrydol. gan ganu a phyncio yn eich calon i'r Arglwydd." 1 Cor. xiv. 15: "Canaf â'r ysbryd a chanaf â'r deall hefyd." Iago v. 13: "A oes neb yn eich plith mewn adfyd? gweddied. A oes neb yn esmwyth arno? caned Salmau."

Y mae yn amlwg gan hyny fod canu mawl yn ddyledswydd bwysig, ac yn rhan arbenig o addoliad y gwir Dduw dan bob goruchwyliaeth, ac yn galw yn uchel am ein sylw manylaf a'n hymdrechion gwresocaf er gwneuthur y rhan ardderchog hon o'n gwasanaeth crefyddol yn y modd ag y fyddo yn cyfateb i natur ac ansawdd y cyfryw.

Gyda gofid dirfawr yr edrychwn ar yr anfanteision mawrion sydd ar ffordd ein cydgenedl y Cymry, a'r annhrefn dirfawr sydd mewn llawer o gynulleidfaoedd crefyddol y dywysogaeth yn nghyflawniad y rhan hon o'r addoliad dwyfol, yr hyn nis gellir yn iawn ei briodoli i ddim yn fwy na phrinder moddion a chyfarwyddiadau priodol yn ein hiaith ein hunain i gyflawni y rhan hon yn deilwng a daladwy.

Hyd yn hyn yr ydym wedi bod dan angenrheidrwydd i fenthyca gan y Saeson a chenedloedd ereill, yr hyn a'n gosododd dan anfanteision dirfawr o herwydd annghymhwysder ac aneffeithioldeb eu cyfansoddiadau, er gwyched a rhagored y gallent fod, pan eu cysylltid â geiriau *difrif-ddwys, parabl-bêr,* a *llawn-llythyr* y Gymraeg, yr hyn a achosid gan y cysylltiad anwahanol sydd rhwng Cerddoriaeth ac Iaith, yn nghyda'r llywodraeth a fedd priod-ddull *(idiom)* y naill ar y llall.

Yn nghylch y dull o ganu y gwahanol leisiau nid wyf yn gosod unrhyw reol neillduol gyda golwg ar y "Caniadau;" rhai a ddewisant roddi y meibion yn unig i ganu y cyfalaw, *(air)* a'r merched yn unig i ganu y meinllais; ac ereill y merched yn unig i ganu y cyfalaw, a'r meibion i ganu y meinllais neu y canol-lais, yr hyn efallai yw y dull cywiraf mewn canu *côraidd*, er nas gallaf feddwl ei fod y dull goraf mewn canu cynulleidfaol; gan hyny, gadawaf ddewisiad y dull at ddeall da arweinwyr a blaenoriaid canu, y rhai a ystyriant alluoedd a chymhwysderau y cynulleidfaoedd y rhai y maent yn blaenori yn eu plith, gan ddewis eu dull yn ol manteision neu anfanteision eu cynulleidfaoedd.

Cyn terfynu caf roddi rhai cyfarwyddiadau byrion i arweinwyr canu, yn gymaint ag mai ar eu hysgwyddau hwynt y gorphwysa yn benaf i iawndrefnu a hwylysu y rhan hon o'r addoliad:—

Yn 1af.—Byddwch yn ymdrechgar a llafurus i gael cyfarfodydd canu mor fynych ag y byddo amgylchiadau a chyfleusderau yn caniatâu, oblegid y mae diffyg yn hyny yn creu difaterwch ac anffyddlondeb yn eraill, yr hyn sydd yn sicr o beri i'r canu fyned yn oer a gwael: ac os bydd i'r canu fyned felly, bydd hyny yn sicr o effeithio ar bob rhan o'r gwaith, i'w gwneyd yn wael a difywyd; oblegid hyd y gwelais i, lle bynag y byddai y canu yn isel ac annhrefnus, byddai pob peth arall yn dwyn yr un ddelw; ond o'r tu arall, lle y byddid yn ddiwyd a llafurus gyda chanu, ac y byddai y rhan hono yn drefnus ac yn cerdded yn hwylus, byddai pob rhan o waith y cysegr yn fywiog a siriol.

Yn 2il.—Byddwch wyliadwrus ar eich tymherau, ac na fyddwch ry feistrolgar a chwannog i fynu eich ffordd eich hun gyda phob peth; eithr byddwch yn barod i roddi lle i geisiadau ac argyhoeddion rhesymol eich cyfeillion, ac hyd yn nod eich ysgolorion. Llawer gwaith y clywais achwyniadau yn erbyn athrawon canu, eu bod y rhai mwyaf pigog, hunanol, ac anhawdd eu trin o bawb yn y byd; yr hyn, mor belled ag y mae yn wirionedd, yw y nodweddiad gwaelaf ag y gall dyn byth fod yn deilwng o hono, ac sydd hefyd yn ei natur yn magu rhagfarn yn mynwesau ereill yn erbyn canu a chantorion yn gyffredinol.

Yn 3ydd.—Byddwch ofalus yn newisiad y tonau a fwriadoch eu dysgu, sef na byddont ry anhawdd a dyrys, gan ystyried galluoedd ac amgylchiadau y gynulleidfa, rhag i chwi wrth ymgyraedd at ormod gorchest a chywreinrwydd, laesu a llwfrhau meddyliau eich dysgyblion, ac felly ddyfetha eu hawydd at ddysgu. Hefyd nis gellir bod yn rhy ofalus i ddewis y cyfryw donau ag a fyddo yn cyfateb mewn modd a chywair i ansawdd y geiriau a fwriadoch eu canu. Ac na fyddwch yn rhy chwannog i ddysgu gormod o donau newyddion, yr hyn sydd yn fai ffynadwy yn mysg rhai cantorion, fel pe byddent yn ystyried eu holl lafur i fod yn gynwysedig mewn dysgu tonau newyddion, yr hyn sydd yn sicr o effeithio er digaloni y gynulleidfa yn gyffredinol, a chyfranu y canu i ryw ychydig o bersonau neillduol; ac ereill, o'r tu arall, o ddiffyg barn ac ystyriaeth, ar ol dysgu tôn newydd, a'i canant ar bob achlysur, nes ei gwneyd yn ddiflas i'r gynulleidfa, fel y darfu i lawer tôn dda gael ei gwneyd yn hollol ddiwerth yn y cyfryw le, a hyny trwy ei harfer yn ormodol ar y cyntaf, nes treulio allan eu hoffder o honi, yr hyn a allesid yn hawdd ei gadw yn fywiog a pharhaus trwy arferiad doeth a chymedrol o honi.

Yn 4ydd.—Wrth ddechreu canu yn gyhoeddus, byddwch ofalus i ddechreu y dôn yn yr amser priodol, gan roddi anghraifft i'r gynulleidfa o'r amser a'r arddull *(style)* yn mha un y dymunech iddi gael ei chanu; ac nid fel rhai dechreuwyr canu, y rhai a ruthrganant nodau cyntaf pob ton heb amser na threfn, gan newid yr amser pan ddylyno y gynulleidfa, yr hyn nas gall dim fod yn fwy anhardd ac annhrefnus. Byddwch ofalus hefyd i roddi eich llais allan, yn enwedig ar y dechre, yn y cyfryw fodd ag y byddoch yn alluog i'w lywodraethu drwy holl ystod y gân. Gochelwch ei wthio drwy waeddi neu floeddio, oblegid trwy hyny chwi a gollwch bob llywodraeth arno, ond gollyngwch ef yn esmwyth a naturiol, trwy yr hyn y cedwch ef dan iawn ddysgyblaeth, ac y byddwch yn alluog i wneyd pob addurniadau a phwysleisiau gofynedig yn y don. Ac na fyddwch yn rhy dueddol i redeg o flaen ereill, megys y mae arfer rhai dechreuwyr canu, y rhai a dybiant, y mae yn debyg, mai eu dyledswydd yw bod ryw gymaint o flaen y gynulleidfa; onid yw hyny yn tueddu yn fwy er dyryswch nag er cynorthwy y gynulleidfa?

Yn 5ed.—Gofalwch am ddechreu y don mewn cyweirnod priodol, heb fod yn rhy uchel nac yn rhy isel, fel y byddo yn canu yn esmwyth a hawdd i'r holl gynulleidfa, ac fel y byddo y gwahanol leisiau yn y gynulleidfa yn cydbwyso yn dda, ac i'w clywed yn beraidd a hyglyw. Tuag at hyny angenrheidiol yw i chwi ddal mewn cof gyweirnod y don ag y byddoch yn myned i'w chanu, ac ymofyn am sain briodol y cyweirnod hwnw oddiwrth ryw safon penderfynol yn eich llais, yr hyn a ffurfir yn hawdd trwy ymarferiad a sylw; neu gellwch arfer rhyw offeryn i gael allan unrhyw o seiniau y Raddfa, yr hyn a'ch cynorthwya yn ebrwydd i gael sain unrhyw nod a ewyllysioch.

Yn 6ed, ac yn olaf.—Bydded i chwi a phawb ymdrechu canu *â'r ysbryd* yn gystal ag â'r deall; a chofiwn gyfarwyddyd y diweddar Barch. John Wesley i'w gynulleidfaoedd i ganu,—"Bydded genych olwg ar Dduw yn mhob gair a genwch; cyfeiriwch at ei foddhau ef yn fwy na chwi eich hun na neb creadur. I'r dyben i wneuthur hyn, sylwch yn fanwl ar feddwl yr hyn yr ydych yn ei ganu; ac edrychwch rhag i'r galon gael ei chario gyda'r sŵn, ond yn cael ei haberthu i Dduw yn wastadol; felly bydd eich canu y cyfryw ag y gwna yr Arglwydd ei gymeradwyo yma, a'i wobrwyo pan y daw ar gymylau y nef."

RICHARD MILLS.

Llanidloes, *Awst* 13*eg*, 1840.

# ELFENAU CERDDORIAETH.

## ELFENAU CERDDORIAETH.

GAN JOHN MILLS.

### I.—YR ERWYDD.

*Gofyniad.* Beth yw cerddoriaeth?

*Ateb.* Y wybodaeth sydd yn egluro egwyddorion canu.

2. Beth yw y wers gyntaf yn y gelfyddyd?

Yr Erwydd; sef pum' llinell wedi eu gwneyd y naill uwchlaw y llall; fel hyn:—



3. Beth yw dyben yr erwydd?

I ysgrifenu y don arno—hyny yw, ar y llinellau ac yn y cyfryngau yr ysgrifenir y nodau.

4. Pa faint o nodau a ellir roi ar yr erwydd?

Naw; ac os bydd eisieu ychwaneg, gellir rhoi un islaw y llinell isaf, ac un arall uwchlaw y llinell uchaf; fel hyn:




5. Beth os bydd eisieu ychwaneg nag un-ar-ddeg?

Gellir ychwanegu y nifer a fynir trwy wneyd gorlinellau oddiar neu islaw yr erwydd; fel hyn:—




6. Ai dyna y cwbl sydd eisieu ei wybod am yr erwydd?

Ie, oddieithr un peth; sef, mai y dull o gyfrif y llinellau a'r cyfryngau yw tuag i fynu. Dyma fo ar un olwg:—




### II.—YR ALLWEDDAU.

7. Beth yw allwedd?

Math o ddarlun a roddir ar un o linellau yr erwydd.

8. Beth yw dyben yr allwedd?

Penodi sefyllfaoedd y nodau. Fel hyn—Y mae gwahanol seiniau cerddoriaeth yn cael eu dynodi â'r llythyrenau *a*, *b*, *c*, *d*. *e*, *ff*, *g*, fel y cawn sylwi etto; yn awr, oni b'ai yr allwedd, nid allem wybod ar ba linell, neu yn mha gyfrwng y dylai *a*, neu *b*, neu unrhyw un arall, fod.

9. A oes mwy nag un allwedd?

Oes, y mae dau mewn arferiad cyffredin yn ein dyddiau ni; sef, allwedd *g*, ac allwedd *ff*.

10. Beth yw allwedd *g?*

Dyma fo:—



Y mae yn cael ei ysgrifenu bob amser ar yr ail linell, gan hyny, y mae yn rhoi sain yr *g* i'r nodau a fo ar y llinell hono. Gellwch ddeall y cwbl wrth yr anghraifft ganlynol:—




11. Beth yw allwedd *ff?*

Dyma fo:—



Y mae yn cael ei roddi bob amser ar y bedwaredd linell; ac felly, yn rhoddi sain yr *ff* i'r nodau a f'o ar y llinell hono, fel y gwelwch wrth yr anghraifft ganlynol:—




12. Ai dyna yr holl wahaniaeth sydd rhwng y ddau allwedd?

Ie, (heblaw y gwahaniaeth llun sy rhyngddynt) y mae y cwbl yn gynnwysedig yn hyn, fod yr allwedd *g* yn peri fod yr *g* ar yr ail linell; ond allwedd *ff* yn peri iddo fod ar y gyntaf; fel y gwelir oddiwrth y ddau anghraifft olaf.

13. A wna iff y naill y tro i'w ddefnyddio yn lle y llall?

Na wna; fe barai hyny ddyryswch: ond arferir yr

allwedd *ff* yn unig at yr isalaw, a'r allwedd *g* at y lleisiau eraill.

Yr oedd allwedd arall mewn arferiad gynt, a elwid allwedd *c;* ond y mae yn awr wedi myned bron o arferiad, yn neillduol mewn cerddoriaeth grefyddol. Yr oedd yr allwedd yma yn cael ei ysgrifenu ar wahanol linellau yr erwydd; ond ar ba linell bynag y gosodid ef, byddai yn rhoddi sŵn yr *c* i'r llinell hono. Er anghraifft:—




## III.—NODAU A'U GORPHWYSION.

14. Pa sawl math o nodau sydd mewn cerddoriaeth?

Chwech; sef, banig, adfanig, gorfanig, crychyn, adgrychyn, a gorgrychyn. Gellwch ddysgu hyn ar un olwg wrth y daflen ganlynol:—



Banig Adfanig Gorfanig Crychyn Adgrychyn Gorgrychyn

15. Paham y defnyddir cymaint o nodau?

Er mwyn rhoi sain hwy a byrach i wahanol seiniau y don.

16. Ai nid yr un hyd yw yr holl nodau uchod?

Nagê; y mae un banig cyhyd a dau adfanig; un adfanig cyhyd a dau gorfanig; un gorfanig cyhyd a dau grychyn; un crychyn cyhyd a dau adgrychyn; ac un adgrychyn cyhyd a dau gorgrychyn.

Gellwch ddysgu hyn eto ar un olwg oddiwrth y daflen ganlynol:—

1 Banig.

2 Adfanig.

4 Gorfanig.

8 Crychyn.

16 Adgrychyn.

32 Gorgrychyn.

17. A ydyw un banig cyhyd a 32 gorgrychyn?

Ydyw; yr un hyd yw pob un o'r banau uchod.

18. Beth yw y gorphwysion?

Math o luniau a ddefnyddir i lenwi yr amser yn lle rhyw un o'r nodau.

19. A oes gorphwysnod i bob nodyn?

Oes; a dylid gorphwys arno cyhyd ag y dylid swnio y nod i ba un y perthyna.

20. Pa fath rai ydynt?

Gellwch eu dysgu yn hawdd ar un olwg wrth y daflen ganlynol:—



Banig Adfanig Gorfanig Crychyn Adgrychyn Gorgrychyn.

Y mae ỷ nodau olaf yma yn myned yn awr allan o arferiad, yn neillduol mewn cerddoriaeth grefyddol; a chedwir yn benaf at y tri math blaenaf.

## IV.—AMSER.

21. Beth a feddylir wrth amser?

Yr hyn sydd yn llywodraethu symudiad unrhyw erddygan neu don o ran parhad y sain a roddir i'w gwahanol nodau; dyma, yn gyffredin, a feddylir wrth amser.

22. Ai nid yr un hyd sydd i'r un nodyn yn mhob ton?

Nage; y mae weithiau yn arafach, a phryd arall yn gyflymach.

23. Pa fodd y gellir gwybod y gwahaniaeth yn hyd y sain?

Oddiwrth yr arwydd a fyddo yn nechreu y don.

24. A oes llawer o'r arwyddion yma?

Y mae tri yn yr *amser cyffredin,* a thri yn yr *amser triphlyg.*

25. Beth a feddyilr wrth amser *cyffredin* ac amser *triphlyg?*

Hyn—y mae yr amser cyffredin yn arwyddo nifer cyfartal o sillau mewn ban, megys dau, pedwar, wyth, &c.; ond y mae yr amser triphlyg yn arwyddo nifer anghyfartal, megys tri, &c. Ond cawn egluro hyn yn fanylach eto wrth son am aceniaeth.

26. Dywedasoch fod tri o arwyddion yn yr amser cyffredin; pa rai ydynt?

Y rhai hyn:—



27. Wel, beth yw y gwahaniaeth sydd rhyngddynt?

Y cyntaf yw y modd arafaf. Y mae un ban o hono yn cynnwys dau darawiad, y rhai a genir tra b'o drunglyn awrlais yn symud pedwar gwaith; hyny yw, pedwar eiliad o amser. Nid oes dim gwahaniaeth rhwng yr ail a'r cyntaf, ond yn unig fod yn rhaid canu ban o hono un radd yn gyflymach na ban o hwnw; felly cenir ban o'r ail fodd mewn tri eiliad. Am y trydydd eto; yr unig wahaniaeth rhyngddo a'r ail a'r cyntaf ydyw, y dylid canu ban o hono un gradd yn gyflymach na ban o'r ail, a dau radd yn gyflymach na ban o'r cyntaf: felly cenir ban o hwn mewn dau eiliad o amser.

28. Ai dyma y cwbl sydd eisieu ei gofio am yr amser cyffredin?

Ië, yn awr; oddieithr y dylid crybwyll ei fod weithiau yn cael ei nodi â'r ffugurau.



29. Beth y mae hyny yn arwyddo?

Dangos y mae fod ban o'r don hono yn cynwys dau gorfanig (neu nodau eraill cyfartal,) yn lle dau adfanig (neu nodau eraill cyfartal.) Mewn gair, nid yw yn ddim amgen na hanner ban yn y modd arafaf: felly, y mae ban, yn y modd yma, i'w ganu tra y rhifir dau.

Gellwch ddysgu y cwbl o hyn ar un olwg wrth y daflen ganlynol:—



Un ban mewn pedwar eiliad o amser.



Un ban mewn tri eiliad o amser.



Un ban mewn dau eiliad o amser.



Un ban mewn dau eiliad o amser.

30. Dywedasoch fod tri o arwyddion neu foddau yn yr amser triphlyg hefyd; pa rai ydynt?

Y rhai canlynol:—



Modd 1af. 2il, 3ydd.

31. Beth y mae y cyntaf yn arwyddo?

Y mae yn arwyddo fod tri adfanig (neu nodau eraill cyfartal iddynt) mewn ban. Dyma y modd arafaf; yr hwn a genir mewn tri eiliad o amser.

32. Beth y mae yr ail yn arwyddo?

Y mae yn arwyddo fod tri gorfanig (neu nodau eraill cyfartal iddynt) mewn ban; y rhai a genir mewn dau eiliad o amser.

33. Beth y mae trydydd yn arwyddo?

Y mae yn arwyddo fod tri chrychyn (neu nodau eraill cyfartal iddynt) mawn ban; y rhai a genir mewn eiliad a hanner o amser.

Gellwch ddysgu hyn oll eto ar un olwg wrth y daflen ganlynol:—



Un ban mewn tri eiliad o amser.



Un ban mewn dau eiliad o amser.



Un ban mewn eiliad a hanner o amser.

34. Ai dyma yr holl amserau a moddau a ddefnyddir mewn cerddoriaeth?

Nagê; y mae ffurfiau eraill mewn arferiad mewn tonau i offerynau; ond nid oes eisieu colli amser gyda rhei'ny, gan y bydd yn eithaf hawdd eu deall wrth eu gweled, ar ol deall y rhai uchod.

35. Ai dyma y cwbl a ddefnyddir mewn caniadaeth grefyddol?

Ië; ac yn wir nid oes angen am gynnifer o foddau: gallai un modd yn mhob amser wneyd y tro; gan fod hyd y nod mewn canu i ddibynu i raddau mawr ar y geiriau a ddefnyddir.

---

## V.—ARWYDDNODAU.

36. A oes amryw luniau neu arwyddion yn ychwanegol mewn cerddoriaeth?

Oes; ac er mwyn i chwi eu hadnabod pan y cyfarfyddwch â hwy mewn llyfrau canu, myfi a osodaf daflen o honynt yn awr ger bron.

| 1 | 2 | 3 | 4 | 5 | 6 | 7 | 8 |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| ♯ | ♭ | ♮ | · | ⌒ | 𝄐 | tr | ʃ |
| Llonnod | Lleddfnod | Naturiol | Mannod | Llithren | Saib | Siglnod | Gogwyddon |

| 9 | 10 | 11 | 12 | 13 |
|---|---|---|---|---|
| 3 | ꜝꜝ | <> | *w* | :‖: |
| Rhifnod addurnawl | Byr-seiniau | Chwyddnod | Cyfeirnod | Attro |

| 14 | 15 | 16 | 17 | 18 |
|---|---|---|---|---|
| Ailadroddnodau | Ban | Ban dyblyg | Diweddglo | Rhwymyn |

37. Beth yw dyben y llonnod?

Codi y nod a fyddo ar ei ol hanner ton yn uwch na'i sefyllfa naturiol. Bwriwch ein bod yn disgyn o *d* i *c*, yr hyn sydd yn don gyfan; ond os rhoddwn lonnod o flaen *c*, ni fydd y disgyniad ond hanner ton.

38. Beth yw dyben y lleddfnod?

Y mae yn gweithredu bob amser yn groes i'r llonnod, sef gostwng y nod fyddo ar ei ol hanner ton yn îs. Bwriwch ein bod yn esgyn o *a* i *b*, yr hyn sydd yn don gyfan; ond os rhoddwn leddfnod o flaen *b* ni fydd yr esgyniad ond hanner ton.

39. Beth yw defnydd y naturiol?

Tynu ymaith effaith y llonnod a'r lleddfnod, a dwyn y nod i'w sefyllfa naturiol.

Gellir amgyffred dybenion y llonnod, y lleddfnod, a'r naturiol yn well, pan y deuwn ymlaen at y pennodau canlynol.

40. Beth yw dyben y mannod?

Chwanegu at hyd y nod y perthyna iddo hanner amser y nod hwnw. Bwriwch ein bod yn ysgrifenu mannod ar ol banig; felly, byddai amser y banig hyny gymaint a thri adfanig.

41. Beth yw swydd y llithren?

Arwydda y dylid canu y nodau fyddo dani ar un sillaf.

42. Beth yw dyben y saib?

Y mae yn arwyddo y dylid dal ar y nod y byddo uwch ei ben, yn hwy na hyd naturiol y nod hwnw.

43. Beth yw swydd y siglnod?

Arwydda y dylid canu y nod y byddo uwch ei ben, yn debyg i saith o dodau cyflym, y naill is-law y llall; fel hyn:—




44. Beth yw dyben y gogwyddon?

Fe'i defnyddir o flaen neu ar ol nodau, i gyrhaedd sain y nodyn yn fwy ysgafn a llithrig; y mae yn cynnwys un rhan o bedair o amser y nodyn y perthyna iddo.

45. Beth yw dyben y rhifnod addurnawl?

Arwydda y dylid canu y nodau y byddo uwch eu penau un gradd yn gyflymach; hyny yw, y rhifnod 3 uwchben tri nodyn, a ddengys y dylid canu y tri nod hyny yn amser dau. Y rhifnod 5 uwchben pump o nodau, a ddengys y dylid eu canu yn amser pedwar.

Y mae y dull cyffredin yma o nodi y rhifnod addurnawl yn wallus; y mae yn groes i ddull rhifnodiad arno. Dyben y ffygyr yw cynnrychioli yr amser sydd i'w roddi i'r nodau f'o islaw iddo. Felly, 2 a ddylai fod, ac nid 3; a 4, ac nid 5; fel y mae mewn rhai llyfrau Cymreig.

46. Beth yw dyben y byr-seiniau?

Arwyddant y dylid canu y nod y byddont uwch ei ben yn gryf, ac yn hanner ei amser naturiol, gan orphwys yr hanner arall.

47. Pa ddyben sydd i'r chwyddnod?

Y mae yn dangos y dylid dechreu canu y nod neu nodau y byddo uwch eu penau, yn wan ac esmwyth, gan gynnyddu y sain hyd y canol, a diweddu yn wan fel y dechreuwyd. Gosodir y chwyddnod mewn gwahanol ddulliau, megys,




ond pa fodd bynag y gosodir ef, dylid cryfhau neu wanhau y sain yn gyfatebol i lun y nod.

48. Beth yw dyben y cyfeirnod?

Pan b'o y don yn parhau i'r tudalen nesaf, ysgrifenir y cyfeirnod ar ol y nod olaf o'r tudalen blaenaf, i ddadgos ar ba linell neu gyfrwng y mae y nod cyntaf yn y tudalen nesaf. Anfynych y defnyddir ef yn awr.

49. Beth yw dyben yr attro?

Dangos y dylid ail ganu rhyw air neu eiriau oddiwrth y nod y byddo uwch ei ben.

50. beth yw defnydd ailadroddnodau?

Y mae y naill neu y llall yn dangos y dylid troi yn ol oddiwrth y fan y byddo, ac ail ganu y rhan hyny o'r erddygan.

51. Beth yw dyben y ban?

I ranu y don yn ddosbeirth cyfartal.

52. Beth yw dyben ban dyblyg?

Fe'i defnyddir yn niwedd rhan gyflawn o'r geiriau.

53. Beth yw y diweddglo?

Y dull cyffredin o derfynu yr erddygan.

54. Beth yw dyben y rhwymyn?

Fe'i defnyddir yn gyffredin i rwymo y ddau brif-lais os bydd y don wedi ei threfnu i'w chwareu âg offeryn, sef yr orloes neu yr eilioneg.

## VI.—SEINIAU CERDDORIAETH.

55. Ar ol ol dysgu yr arwyddnodau yma, beth sydd yn nesaf i'w ddeall?

Seiniau cerddoriaeth.

56. A oes llawer iawn o rhei'ny?

Nag oes; dim ond saith.

57. A oes dim ond saith yn yr holl donau sydd yn y byd?

Nac oes. Fel y mae ychydig o lythyrenau (sef yr egwyddor) trwy eu cysylltu yn wahanol yn ffurfio miloedd o eiriau mewn iaith; felly y mae saith o seiniau mewn cerddoriaeth yn ffurfio miloedd o wahanol donau.

58. Pa rai yw y seiniau hyny?

Unrhyw saith a genir yn olynol. Dechreuwch efo rhyw sain, a chodwch o un i un nes cyrhaedd saith; a'r seiniau rhei'ny fydd y rhai yr ydym yn son am danynt. Fel hyn:




Dyna gymaint o wahanol seiniau sydd yn ddichonadwy gael. Fe'i cenir yn gyffredin ar y llythyrenau *a*, *b*, *c*, *d*, *e*, *ff*, *g*.

59. Onid ellir codi i wyth a naw, ac ychwaneg, yn gystal ag i saith?

Gellir; ond nid gwahanol seiniau yw y rhei'ny; ond ail-adroddiad o'r rhai blaenaf, wyth radd yn uwch. Gellwch ddeall hyny yn well wrth yr anghraifft ganlynol:—




Yn awr, rhoddwch ryw sain benodol i'r nod cyntaf, a chodwch o sain i sain nes cyrhaedd y seithfed—chwi gan-

fyddwch yn amlwg fod pob sain yn wahanol i'w gilydd. Ond wrth godi o'r seithfed i'r wythfed, y mae y sain cyntaf yn dyfod i mewn drachefn—y nawfed yw yr ail—y degfed yw y trydydd; ac felly yn y blaen. Gan hyny, nid oes ond un rhifres o seiniau, sef y saith cyntaf; ond y gellir myned dros y rhai hyny, y naill rif-res ar ol y llall, nes eu dyblu liaws o weithiau.

60. Pa fodd y gellir profi mai yr un sain yw yr wythfed a'r cyntaf?

Y mae yn ddigon hawdd—tra b'o rhyw un yn swnio y cyntaf, swnied un arall yr wythfed; ac yna chwi a gewch brawf mai yr un sain yw y ddau, ond bod yr wythfed, fel y sylwyd, gymaint a hyny yn uwch yn y raddfa.

---

## VII.—Y RADDFA NATURIOL.

61. Beth yr ydych yn ei feddwl wrth *raddfa naturiol?*

Ystyr y gair *graddfa* mewn cerddoriaeth yw, cyfres o seiniau perthynasol; gan hyny, graddau naturiol yw y seiniau y buom yn son am danynt yn y bennod olaf, wedi eu rhoddi at eu gilydd i wneyd un rhes o seiniau.

62. Ai y saith sain yma yw y raddfa naturiol?

Ië, dim mwy na dim llai; enw ydyw ar y seiniau hyny.

63. Wel, a oes eisiau gwybod rhywbeth ymhellach am danynt?

Oes, y mae eisiau gwybod y pellder sydd rhyngddynt, hyny yw, rhwng y naill sain a'r llall.

64. Ai nid yr un pellder sydd rhwng y cwbl?

Nage; y mae ton gyfan rhwng pump o honynt, ond dim ond hanner ton rhwng y ddau arall.

65. Ai y meddwl yw, mai hanner cymaint o sain yw dau o honynt ag ydyw y pump eraill?

Nage; y mae pob un mor gyflawn fel sain a'u gilydd; hyny yw, y mae pob un, fel eu gilydd, yn sain perffaith.

66. Wel, pa le y mae y gwahaniaeth?

Yn y pellder sydd rhyngddynt. Fel hyn:—bwriwch eich bod yn rhoddi tair careg yn rhes, yr ail yn llathen oddiwrth y gyntaf, ond y drydydd ddim ond hanner llath oddiwrth yr ail. Gall y ceryg fod yr un faint, yr un llun, a'r un pob peth; ond y mae y pellder sydd rhyngddynt yn wahanol. Wel, tebyg i hyna ydyw gyda'r seiniau. Y mae y seiniau yr un mor gyflawn a'u gilydd, ond y mae gwahaniaeth yn y pellder sydd rhyngddynt.

67. Rhwng pa rai y mae y tonau a'r hanner tonau?

Y mae yr hanner tonau yn gorphwys rhwng y trydydd a'r pedwerydd, a rhwng y seithfed a'r wythfed; felly y mae tonau cyfain rhwng y lleill. Gellir egluro y cyfan ar un olwg mewn taflen; fel hyn:—




Yn awr, fe welir fod ton gyfan o'r cyntaf i'r ail; ton gyfan o'r ail i'r trydydd; hanner ton o'r trydydd i'r pedwerydd; ton gyfan o'r pedwerydd i'r pummed; ton gyfan o'r pummed i'r chweched; ton gyfan o'r chweched i'r seithfed; a hanner ton o'r seithfed i'r wythfed.

68. Pa seiniau yw y cyntaf, yr ail, &c., yn y daflen uchod?

Nid yw o bwys pa un. Rhoddwch y sŵn a fynoch i'r gyntaf, a chodwch yn rheolaidd o sain i sain: fe fydd yr hanner tonau yn sicr o ddygwydd fel y nodir hwy uchod.

69. Nid heb i'r canwr ofalu am eu swnio felly, ai ïe?

Ië, peth naturiol ydyw—peth ag y mae pawb yn ei wneyd fel eu gilydd, yr anwybodus fel y mwyaf celfyddgar.

70. Wel, beth yw yr achos fod ton gyfan rhwng y pump a nodwyd, a dim ond hanner ton rhwng y ddwy eraill?

Y mae yn anhawdd dyweyd. Pe treuliem ychwaneg o amser uwchben y pwnc, nid allem gyrhaedd nemawr pellach na hyn; sef ei fod yn bod—ei fod yn ffaith mewn cerddoriaeth, a ffaith nad ellir esbonio yr achos o honi. Pa fodd bynag, ar hyn y mae holl rym cerddoriaeth yn dibynu, fel y cawn weled wrth fyned ymlaen.

---

## VIII.—Y RADDFA OSLEFOL.

71. Beth yr ydych yn ei feddwl wrth *raddfa oslefol?*

*Goslef* yw hanner ton; felly yr un peth yw dywedyd goslefol a hanner-tonol: gan hyny, graddfa oslefol yw graddfa yn symud trwy hanner tonau.

72. Pa wahaniaeth sydd rhwng y raddfa yma a'r un naturiol?

Hyn:—y mae hono yn cynnwys tonau cyfain yn benaf; ond hon dim ond hanner tonau.

73. Felly y mae dwy rês o seiniau gwahanol yn bod?

Na, fel hyn y mae. Y mae y saith sain, fel y sylwyd, yn eu ffurf naturiol, yn cynnwys pum' ton gyfan, a dwy hanner ton, ac yn y ffurf hyny fe'i gelwir yn raddfa naturiol; ond y mae modd rhanu y tonau rheiny yn hanner tonau, ac felly gwneyd y cwbl yn hanner tonau, ac yn y ffurf newydd yma fe'i gelwir yn raddfa oslefol.

74. Felly, yr un seiniau yw sylwedd y ddwy raddfa, onidê?

Ië; yn y gyntaf y maent yn eu sefyllfa naturiol; ond yn yr ail yn eu sefyllfa gelfyddydol.

75. Pa fodd y mae y raddfa oslefol yn cael ei ffurfio?

Trwy ddefnyddio llonnodau a lleddfnodau. Wrth esgyn, defnyddir y llonnodau; ond wrth ddisgyn, y lleddfnodau.

66. A ellwch chwi egluro hyn drwy anghraifft?

Gallaf. Dyma i chwi daflenau yn cynnwys y pwnc ar un olwg.

Y raddfa Oslefol yn esgyn trwy lonnodau.



Y raddfa Oslefol yn disgyn trwy leddfnodau.



77. Pa fodd y mae eu deall?

Y mae hyny yn bur hawdd; fel hyn. O *c* i *c* lon, y mae hanner ton; o *c* lon i *d* naturiol, y mae hanner ton; o *d* naturiol i *d* lon, y mae hanner ton; o *d* lon i *e* naturiol, y mae hanner ton; o *e* i *ff* y mae hanner ton; o *ff* naturiol i *ff* lon y mae hanner ton; o *ff* lon i *g* naturiol y mae hanner ton; o *g* naturiol i *g* lon y mae hanner ton; o *g* lon i *a* naturiol y mae hanner ton; o *a* naturiol i *a* lon y mae hanner ton; o *a* lon i *b* naturiol y mae hanner ton; ac o *b* naturiol i *c* y mae hanner ton.

Dyna ni wedi myned trwy esgyniad y raddfa—y mae y disgyniad fel hyn eto. O *c* naturiol i *b* y mae hanner ton; o *b* naturiol i *b* leddf y mae hanner ton; o *b* leddf i *a* naturiol y mae hanner ton; o *a* naturiol i *a* leddf y mae hanner ton; o *a* leddf i *g* naturiol y mae hanner ton; o *g* naturiol i *g* leddf y mae hanner ton; o *g* leddf i *ff* naturiol y mae hanner ton; o *ff* i *e* naturiol y mae hanner ton; o *e* naturiol i *e* leddf y mae hanner ton: o *e* leddf i *d* naturiol y mae hanner ton; o *d* naturiol i *d* leddf y mae hanner ton; o *d* leddf i *c* y mae hanner ton.

78. Ai dyna y cwbl sydd eisieu ei ddeall am y raddfa yma?

Ie: y cwbl sydd yn anghenrheidiol i chwi ei ddeall a dal arno, yw y dull y mae y tonau cyfain yn cael eu rhanu yn hanner tonau, trwy ddefnyddiad y llonnodau a'r lleddfnodau.

79. I ba ddyben y rhenir y tonau fel hyn, yn hanner tonau?

Ni a ganfyddwn y dyben yn well yn ein hymdriniad â'r pennodau canlynol, nag y gellir ei egluro yn y lle hwn.

---

## IX.—Y CYWEIRIAU.

80. Beth ydyw cywair?

Cywair yw ysgogiad neu symudiad peroriaethol unrhyw don. Neu, mewn geiriau eraill, y dull neu y modd y b'o seiniau cerddoriaeth wedi eu huno â'u gilydd i wneyd ton, ydyw y cywair.

81. O'r braidd yr wyf yn deall yr atebiad; a oes dim modd ei wneyd yn fwy amlwg?

Dichon y gellir; er, efallai, y gellwch amgyffred y pwnc yn well oddiwrth yr ymdrafod a wnawn arno ymhellach, nag oddiwrth unrhyw ddarnodiad a ellir wneyd o hono. Gwyddoch eisoes mai saith o seiniau sydd mewn cerddoriaeth, ac mai trwy gysylltu rhai hyny â'u gilydd y gwneir ton neu erddygan. Yn awr, y mae effaith y don hono yn dibynu ar y ffurf yr unir y seiniau, a'r ffurf hyny a elwir yn gywair.

82. A oes mwy nag un ffurf?

Oes, y mae dau ffurf cyffredinol; un yn rhoi effaith llawen yn y don; a'r llall yn rhoi effaith trist.

83. Felly, dau fath o gywair sydd yn bod, ai ïe?

Ie, dim ond dau fath; sef cywair llon, a chywair lleddf.

84. Ai yr un peth yw cywair a chyweirnod?

Nage; cyweirnod yw y nod y byddys yn cychwyn o hono, ac yn terfynu ynddo. Neu, mewn geiriau eraill, cyweirnod yw prif sain y don—y sain, ar ba un y mae y seiniau eraill yn dibynu.

85. A ellwch chwi egluro hyn drwy anghraifft?

Gallaf. Cymerwn yr 'Hen Ganfed,' y mae ei halaw yn rhedeg fel hyn:—



Yn awr, y cyweirnod yw *a*, ac yn y cyweirnod y mae yn cychwyn, ac os deliwch sylw wrth ganu y don uchod, chwi deimlwch fod y llais yn gorphwys ar y nod hwnw; ond ar y nodau eraill y mae megys oddicartref. Felly y mae trwy y don; a rhaid i'r llais gael gafael ar yr *a* cyn y caiff orphwysfa.

86. Ai yr un nod bob amser yw y cyweirnod?

Nage; gellir gwneyd unrhyw un o nodau y raddfa yn gyweirnod llon neu leddf; er mai dau naturiol sydd.

87. Pa rai ydyw y rhai hyny?

Y cyweirnod llon yw *c*, a'r cyweirnod lleddf yw *a*.

88. Paham yr ydych yn galw y rhai hyn yn gyweirnodau naturiol?

Am nad oes eisiau na llonnod na lleddfnod yn nechreu y don efo y rhai hyn.

89. A oes eisieu llonnod neu leddfnod efo cyweirnodau eraill?

Oes, fel y cawn ddangos yn y bennod nesaf.

90. Beth sydd eisieu i mi ei ddeall am y cyweiriau yma?

Y mae eisiau i chwi ddeall sefyllfa yr hanner tonau yn y ddau gywair; neu mewn geiriau eraill, y pellder sydd rhwng y cyweirnod a'r hanner tonau, yn y cywair llon ac yn y cywair lleddf.

91. A ydyw deall hyny yn beth anhawdd?

Nac, ydyw; y mae yn beth hawdd. Nyni a ddechreuwn efo y cywair llon; ac fe saif y pwnc fel hyn:—

C–8— hanner ton.
B–7— ton.
A–6— ton.
G–5— ton.
F–4— hanner ton.
E–3— ton.
D–2— ton.
C–1

Yn awr, y cyweirnod yw y cyntaf, sef *c*, ac fe welir fod ton gyfan rhwng y cyntaf a'r ail; ton gyfan rhwng yr ail a'r trydydd; hanner ton rhwng y trydydd a'r pedwerydd; ton gyfan rhwng y pedwerydd a'r pummed; ton gyfan rhwng y pummed a'r chweched; ton gyfan rhwng y chweched a'r seithfed; a hanner ton rhwng y seithfed a'r wythfed. Felly, y mae yr hanner tonau yn y cywair llon, rhwng y *trydydd* a'r *pedwerydd*, a rhwng y *seithfed* a'r *wythfed* oddiwrth y cyweirnod.

Efallai y cofiwch y peth yn well pe troem y daflen uchod i nodau; fel hyn:—



Y mae y rhwymynau yn dangos sefyllfaoedd yr hanner tonau.

92. Tybiwn fy mod yn deall y cywair llon; ond sut y mae y cywair lleddf?

Y mae hwnw yn sefyll fel hyn:—

A--8— ton.
G--7— ton.
F--6— hanner ton.
E--5— ton.
D--4— ton.
C--3— hanner ton.
B--2— ton.
A---1—

Yma, eto, y cyweirnod yw y cyntaf, sef *a*, ac fe welir fod ton gyfan rhwng y cyntaf a'r ail; hanner ton rhwng yr ail a'r trydydd; ton gyfan rhwng y trydydd a'r pedwerydd; ton gyfan rhwng y pedwerydd a'r pummed; hanner ton rhwng y pummed a'r chweched; ton gyfan rhwng y chweched a'r seithfed; a thon gyfan rhwng y seithfed a'r wythfed. Felly, y mae yr hanner tonau, yn y cywair lleddf, rhwng yr *ail* a'r *trydydd*, a rhwng y *pummed* a'r *chweched*, oddiwrth y cyweirnod.

Nyni a drown y daflen uchod eto i nodau; fel hyn:—




Y mae y rhwymynau yn dangos sefyllfa yr hanner tonau.

93. Tybiwn fy mod yn deall hyn eto. A oes dim yn mhellach eisieu ei wybod am y cyweiriau?

Oes, y mae eisieu i chwi wybod y gwahaniaeth sydd rhwng alaw y ddau gywair.

94. Pa wahaniaeth?

'Wrth ffurfio yr wythawd yn y cywair llon yn don, nid oes eisieu un cyfnewidiad ar y nodau wrth esgyn nac wrth ddisgyn; ond yn y cywair lleddf, pan b'o y don yn esgyn i'r wythfed, fe lonir y chweched a'r seithfed yn y dull canlynol:—



95. Paham y mae eisiau lloni y ddau nodyn uchod?

Y mae eisieu lloni y seithfed, fel na byddo y pellder rhwng y seithfed a'r wythfed (neu *gyweirnod)* dros hanner ton. A llonir y chweched, fel na byddo y pellder rhwng y chweched a'r seithfed yn fwy na thon.

96. O'r braidd yr wyf yn deall. A eglurwch chwi yn mhellach?

Fel hyn. Rhaid i'r pellder rhwng y seithfed a'r wythfed beidio bod ond hanner ton; ond yn y cywair lleddf, y mae yn don gyfan; am hyny, rhoddir llonnod ar y seithfed i godi y nod hwnw hanner ton yn uwch; felly, nid yw y pellder mwy ond hanner ton. Ar ol lloni y seithfed fel hyn, y mae y pellder rhwng y chweched a'r seithfed yn don a hanner, ond i attal hyny, rhoddir llonnod ar y chweched i godi hwnw hanner ton yn uwch; felly, nid yw y pellder mwy ond ton.

---

## X.—TRAWSDDODIAD Y CYWEIRIAU.

97. Dywedasoch yn y bennod olaf, fod modd gwneyd unrhyw nod o'r wythawd yn gyweirnod, onid do?

Do: a'r drefn o wneyd hyny a elwir yn *drawsddodiad y cyweiriau.*

98. Ond pa angen sydd am hyny?

Hyn. Bwriwch ein bod yn cyfansoddi ton yn *c*, ac wrth ei chanu yn cael ei bod yn rhy isel neu yn rhy uchel, fe fyddai eisieu ei symud i fynu os yn rhy isel, ond i lawr os yn rhy uchel.

99. A ellir dim gwneyd hyny yr un fath ag y rhoddwyd hi ar y dechreu yn *c?*

Y mae rheol i symud y cyweirnod, ac nid ellir ei symud ond yn ol y rheol hono.

100. Beth ydyw y rheol hono?

Dyma hi. Bod eisiau dwyn yr hanner tonau i'r un berthynas âg unrhyw gyweirnod, ac ydynt yn naturiol i *c* ac *a*.

101. A ellwch chwi ddim geirio hyn yna mewn dull arall eto?

Gallaf, fel hyn. Bwriwch mai ton lon fyddai, a bod eisiau ei symud i *d;* yn awr, y mae yn rhaid cael yr hanner tonau i'r un berthynas â *d*, ag oeddynt o'r blaen ag *c*, sef rhwng y trydydd a'r pedwerydd, a rhwng y seithfed a'r wythfed. Yn y cywair lleddf hefyd, y mae yn rhaid i'r hanner tonau fod yn yr un berthynas â'r cyweirnod newydd ag oeddent ag *a* naturiol, sef rhwng yr ail a'r trydydd, a rhwng y pummed a'r chweched.

102. Pa fodd y gellir gwneyd hyny?

Trwy ddefnyddio llonnodau a lleddfnodau. Dechreuwn gyda llonnodau.

103. Wel, beth yw y peth cyntaf i mi ddal arno?

Cofio sefyllfa yr hanner tonau yn naturiol.

104. Beth yn nesaf?

Cofio, pa nod bynag a wneir yn gyweirnod llon, fod eisieu symud yr hanner tonau i'r un berthynas â'r nod hwnw, ag ydynt yn naturiol, &c.; a pha nod bynag a wneir yn gyweirnod lleddf. fod eisieu dwyn yr hanner tonau i'r berthynas uchod â hwnw hefyd, ag ydynt âg *a* yn naturiol.

105. Yr wyf yn dal hyny yn fy meddwl; ond sut y mae eu symud trwy lonnodau?

Trwy roddi llonnod ar y nod uchaf a berthyn i'r hanner ton, i godi yr hanner ton un radd yn uwch. Fel hyn: bwriwch ein bod yn cyfansoddi ton â'i chyweirnod yn *g*, ond heb symud yr hanner tonau, fe saif y don fel hyn:—




Yn awr, cyfrifwch o'r cyweirnod i'r hanner tonau, a chwi a ganfyddwch fod y cyntaf, sef yr un rhwng *e* ag *ff*, rhwng y chweched a'r seithfed; a'r llall, sef yr un rhwng *b* a *c*, rhwng y trydydd a'r pedwerydd, oddiwrth *g*, y cyweirnod.

106. Y maent felly; ac y mae yr olaf yn ei le, onid yw? Ydyw, y mae.

107. Y mae y llall o'i le, onid yw?

Ydyw; yn lle bod rhwng *e* ac *ff*, y chweched a'r seithfed, dylai fod rhwyng *ff* ac *g*, y seithfed a'r wythfed.

108. Pa fodd y ceir ef yno?

Trwy roddi llonnod ar *ff* i godi yr hanner ton un radd yn uwch. Fel hyn:—



109. Dyna yr hanner tonau yn awr yn eu lle, onide?

Ie, y mae *g* yn awr yn gyweirnod mor briodol ag oedd *c* yn naturiol.

110. A ydyw llonnod ar *ff* yn nechreu ton yn arwyddo bob amser bod y don hono â'i chyweirnod yn *g?*

Ydyw, os bydd y cywair yn llon.

111. Beth os bydd y cywair yn lleddf?

Fe fydd y cyweirnod yn *e*.

112. Pa fodd y gall hyny fod?

Am fod y ddau gyweirnod yn canlyn o fewn trydydd i'w gilydd yn mhob symudiad.

113. A ydyw y cyweirnod llon a'r cyweirnod lleddf yn canlyn eu gilydd?

Ydynt; yr un fath ag yn eu sefyllfa naturiol. Gwyddoch fod *c* yn drydydd uwchlaw *a*, ac *a* yn drydydd islaw *c;* felly y mae yn mhob symudiad. Pan y gwneir unrhyw nod yn gyweirnod llon, y mae y trydydd islaw i'w ystyried yn gyweirnod lleddf; ac yn y gwrthwyneb, pan y mae unrhyw nod yn cael ei wneyd yn gyweirnod lleddf, y mae y trydydd uwchlaw i'w ystyried yn gyweirnod llon.

114. Ai nid yw bod llonnod yn nechreu y don yn arwyddo fod y don hono yn un lon?

Nag ydyw; ac nid yw bod lleddfnodau yn arwyddo ei bod yn un leddf. Ond y mae pob symudiad ar yr hanner ton, pa un bynag ai trwy lonnod ai lleddfnod, yn gwneyd dau gyweirnod, un llon ac un lleddf.

115. Ond pa fodd y gellir gwneyd yr holl nodau yn gyweirnodau?

Yr un modd ag y gwnaed *g*, sef trwy yr hanner tonau; ac er mwyn cael golwg trwyadl o'r pwnc, ni a awn a chwi trwy yr holl symudiad, gan ddechreu yn y cyweirnodau naturiol.

Hanner tonau. Cywair C lon naturiol.

Hanner tonau. Cywair A leddf naturiol.

Hanner tonau. Cywair C lon trwy lonnodau

Hanner tonau. Cywair E leddf trwy lonnodau.

Hanner tonau. Cywair D lon trwy lonnodau.

Hanner tonau. Cywair B leddf trwy lonnodau.

Hanner tonau. Cywair A lon trwy lonnodau.

Hanner tonau. Cywair FF leddf trwy lonnodau.

Hanner tonau. Cywair E lon trwy lonnodau.

Hanner tonau Cywair C leddf trwy lonnodau.

Hanner tonau. Cywair B lon trwy lonnodau.

Hanner tonau. Cywair G leddf trwy lonnodau.

Hanner tonau. Cywair FF lon trwy lonnodau.

Hanner tonau. Cywair D leddf trwy leddfnodau.

Dyma ni wedi myned trwy y gorchwyl gyda y llonnodau; deuwn yn awr at y lleddfnodau.

116. Cyn myned at y lleddfnodau, byddai yn dda genyf allu cofio pa faint o lonau a ddylai fod i wneyd pob un o'r nodau yn gyweirnod. A ellwch chwi ddim fy nghynnorthwyo?

Gallaf; fe fydd dysgu y daflen ganlynol yn eich galluogi ar unwaith i wneyd hyny.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| *Un llonnod* a ddengys fod y cywair llon yn | | | G, | y lleddf yn | | E. |
| *Dau lonnod* | " | " | " D, | " | | B. |
| *Tri llonnod* | " | " | " A, | " | | Ff. |
| *Pedwar llonnod* | " | " | " E, | " | | C. |

*Pum llonnod* " " " B, " G.
*Chwe' llonnod* " " " Ff, " D.

117. Wel, a oes gwahaniaeth rhwng trawsddodi a lleddfnodi rhagor â llonnodau?

Dim ond hyn: fod y llonnod yn codi yr hanner ton un radd yn *uwch*, ond y lleddfnod yn tynu yr hanner ton un radd yn *is*. Felly, y mae y ddau yn gweithredu yn groes i'w gilydd. Ond er mwyn i chwi ddeall y pwngc yn drwyadl, ni awn eto trwy yr holl symudiadau trwy leddfnodau, gan ddechreu yn y cyweirnodau naturiol.


Hanner tonau. Cywair C lon naturiol.


Hanner tonau. Cywair A leddf naturiol.


Hanner tonau. Cywair FF lon trwy leddfnodau.


Hanner tonau. Cywair D leddf trwy leddfnodau.


Hanner tonau. Cywair B lon trwy leddfnodau.


Hanner tonau Cywair G leddf trwy leddfnodau.


Hanner tonau. Cywair E lon trwy leddfnodau.


Hanner tonau. Cywair C leddf trwy leddfnodau.


Hanner tonau. Cywair A lon trwy leddfnodau.


Hanner tonau. Cywair FF leddf trwy leddfnodau.


Hanner tonau. Cywair D lon trwy leddfnodau.


Hanner tonau. Cywair B leddf trwy leddfnodau.


Hanner tonau. Cywair G lon trwy leddfnodau.


Hanner tonau. Cywair E leddf trwy leddfnodau.

Dyma ni eto wedi myned trwy yr holl symudiadau trwy leddfnodau; a'ch gorchwyl chwi yw sylwi pa fodd y mae y lleddfnodau yn effeithio ar yr hanner tonau, i'w dwyn i berthynas briodol â'r cyweirnodau.

118. Tybiwyf fy mod yn deall pob symudiad; ond a ellwch chwi roddi taflen eto o'r lleddfnodau, er mwyn cynnorthwyo y côf, fel y gwnaethoch efo y llonnodau?

Gallaf dyma hi:—

*Un lleddfnod* a ddengys fod y cyw. llon yn Ff, y lleddf yn D.
*Dau leddfnod* " " B, " G.
*Tri lleddfnod* " " E, " C.
*Pedwar lleddfnod* " A, " Ff.
*Pum' lleddfnod* " " D, " B.
*Chwe' lleddfnod* " " G, " E.

---

## XI.—TRAWSGYWEIRIANT.

119. Beth ydyw *Trawsgyweiriant?*

Y drefn o symud o un cyweirnod i gyweirnod arall, neu o un cywair i gywair arall yn nghanol ton neu anthem.

120. Ai nid yr un peth yw hyn a thrawsddodiad?

Nage: wrth drawsddodi yr ydym yn symud yr holl don yn uwch neu yn îs; ond trawsgyweiriant yw symud megys darn o honi.

121. O'r braidd yr wyf yn deall hyna; a oes dim modd ei wneyd yn eglurach?

Fel hyn: bwriwch eich bod yn canu ton yn y cywair llon, ond bod rhyw gyfran o honi yn troi i'r cywair lleddf; yn awr, y drefn o newid o'r llon i'r lleddf yw trawsgyweiriant.

122. Trawsgyweiriant, gan hyny, yw newid o un cywair i gywair arall yn nghorff y don, onidê?

Y mae trawsgyweiriant yn cynnwys hyny, ond y mae yn cynnwys ychwaneg; y mae yn cynnwys, fel y dywedwyd, newid y cyweirnod yn yr un cywair. Felly, y mae trawsgyweiriant yn cynnwys symud o un cyweirnod i gyweirnod arall a chadw yr un cywair; neu symud o un cywair i gywair arall.

123. A oes eisieu gwybod rhywbeth yn ychwaneg na hyna am drawsgyweiriant?

Oes; y mae eisieu gwybod y rheolau a berthyn i'r pwnc: neu, y gyfundraeth o drawsgyweirio.

